# Y'R ABC.

## Neu Catechisme:

sef yw hynny, i'w dysgu gan pob plentyn, cyn ei ddwyn i'w gonffirmio gan yr *Escob.

*bishop*



A'i printio yn Llundain gan IOAN BEALE, 1633.

Ex dono Ric: Griffith de Whitney Court in Com: Hereford. Thos: Clayton.



# A B C
## neu Egwyddor gymraeg.

a b c ch d dd e f ff g ng h i
l ll m n o p ph q r ꝛ ſ s t th u
w x y z.

B C D E F G H I K L
N O P Q R S T U
X y Z.

nid yw angen-
haid q x z ſy } yn y Gymraeg
dieithr

a e i o u w y.

*n the name of yᵉ father &*

Yn enw i'r Tad, a'r
ab, a'r Yſpryd glan.
men.



# Y Catechism:

## sef i'w hynny,

## Athrawiaeth i'w dyscu

gan bob plentyn, cyn ei
ddwyn i'w gonffirmio
gan yr *Escob*.

Qwestion.



Beth yw dy enw di?

Atteb.

N. neu M. neu'r cyfryw.

Q. Pwy a roddes yr enw hwnnw arnat ti?

A. Fy nhadau bedydd am mammau bedydd wrth fy medyddio, pan i'm gwnaethpwyd yn aelod i Grist, yn blentyn i Dduw, ac yn etifedd teyrnas nef.

Q. Pa beth a wnaeth dy dadau bedydd a'th fammau bedydd yr amser hwnnw trosot ti?

A. Hwy

A. Hwy a addawsant, ac a addunasant dri pheth yn fy enw. Yn gyntaf, ymwrthod o honof a diafol, ac a'i holl weithredoedd a'i rodres, gorwagedd y byd anwir, a phechadurus chwantau 'r cnawd. Yn ail bod i mi gredu holl byngciau ffydd Grist. Ac yn drydydd cadw o honof wynfydedic ewyllys Duw ai orchymmynion, a rhodio ynddynt holl ddyddiau fy mywyd.

Q. Onid wyt ti yn tybied dy fod yn rhwymedig i gredu ac i wneuthur megis ac yr addawsant hwy trosot ti?

A. Ydwyf yn wir, a thrwy nerth Duw felly y gwnaf. Ac yddwyf yn mawr ddiolch i'n Tad nefol, am iddo fy ngalw i gyfryw Iechydwriaeth hyn, trwy Iesu Grist ein Iachawdur. Ac mi a atolygaf i Dduw roddi i mi ei rad, modd y gallwyf aros ynddo holl ddyddiau fy einioes.

Q. Adrodd i mi fannau dy ffydd?

I beleeve in god Atteb.

Credaf yn Nuw Dad hollgyfoethog, Crëawdr nef a daiar. Ac yn Iesu Grist ei un Mab ef ein Harglwydd ni, yr hwn a gafwyd trwy 'r Yspryd glan, a aned o Fair forwyn, a ddioddefodd tan Pontius Pilat, a groes-hoeliwyd, a fu farw, ac a gladdwyd. Descynnodd i uffern. Y trydydd dydd y cyfododd o feirw. Derchafodd i'r nefoedd, ac eistedd y mae ar ddehen-law Dduw Dad holl-alluog. Oddi yno y daw i farnu byw a meirw. Credaf yn yr Yspryd glan, Yr Eglwys lan Gatholic, Cymmun y Saint, Maddeuant pechodau, Cyfodiad y cnawd, A'r bywyd tragywyddol. Amen.

Q. Pa beth yr wyt ti yn ei ddyscu yn bennaf yn y pyngciau hyn o'th ffydd?

what doest thou cheifly learne A. Yn

A, Yn gyntaf, yr wyf yn dyscu credu yn Nuw Dad, yr hwn a'm gwnaeth i a'r holl fyd.

Yn ail, yr ydwyf yn credu yn Nuw Fab, yr hwn a'm prynodd i, a phob rhyw ddyn.

Yn drydydd, yr wyf yn credu yn Nuw Yspryd glan, yr hwn sydd i'm sancteiddio i, a holl etholedig bobl Dduw.

Q. Ti a ddywedaist ddarfod *yo[u] say* i'th dadau bedydd a'th fammau bedydd, addo trosot ti, fod i ti gadw gorchymmynion Duw, Dyweit tithen i-mi, pa nifer sydd o honynt?

Atteb.

Deg. *Ten.*

Question.

Pa rai ydynt? *wch be they.*

Atteb.

*the same wch god spake*

Y Rhai hynny a lefarodd Duw yn yr ugeinfed bennod o Exodus, gan ddywedyd, Myfi yw'r

Arglwydd dy Dduw, yr hwn a'th ddug di ymmaith o dir yr Aipht, o dy y caethiwed.

Com: I. Na fydded i ti dduwiau eraill onid myfi.

Lord have mercy &c. Arglwydd trugarha wrthym, a gostwng ein calonau i gadw y gyfraith hon.

Com: II. Na wna it dy hun ddelw gerfiedic, na llun dim ac y sydd yn y nefoedd uchod, neu yn y ddaiar isod, nac yn y dwfr tan y ddaiar. Na ostwng iddynt, ac na addola hwynt: oblegid myfi yr Arglwydd dy Dduw wyf Dduw eiddigus, yn ymweled a phechodau'r tadau ar y plant, hyd y drydedd a'r bedwaredd genhedlaeth o'r rhai a'm casant, ac yn gwneuthur trugaredd i filoedd o'r rhai a'm carant, ac a gadwant fyngorchymynion.

Arglwydd trugarha wrthym, &c.

III. Na chymmer Enw yr Arglwydd dy Dduw yn ofer, canys nid gwirion gan yr Arglwydd yr

hwn

hwn a gymero ei Enw ef yn ofer.

Arglwydd trugarha wrthym, &c.

IIII. Coſia gadw yn ſanctaidd y dydd Sabbath. Chwe diwrnod y gweithi, ac y gwnei dy holl waith: eithr y ſeithfed dydd yw Sabbath yr Arglwydd dy Dduw: ar y dydd hwnnw na wna ddim gwaith, tydi na'th fab na'th ferch, na'th was, na'th forwyn, na'th anifail, na'r dyn dieithr a fyddo o fewn dy byrth. Canys mewn chwe diwrnod y gwnaeth yr Arglwydd nef a daiar, y mor, a'r hyn oll ſydd ynddynt, ac a orphwyſodd y ſeithfed dydd. O herwydd paham y bendithiodd yr Arglwydd y ſeithfed dydd, ac a'i ſancteiddiodd ef.

Arglwydd trugarha wrthym, &c.

V. Anrhydedda dy dad a'th fam fel yr eſtynner dy ddyddian ar y ddaiar, yr hon a rydd yr Arglwydd dy Dduw i ti.

Arglwydd trugarha wrthym, &c.

VI. Na ladd.

Arglwydd trugarha wrthym, &c

VII. Na wna odineb.

Arglwydd trugarha wrthym, &c.

VIII. Na ladratta.

Arglwydd trugarha wrthym, &c.

IX. Na ddwg gam dystiolaeth yn erbyn dy gymmydog.

Arglwydd trugarha wrthym, &c.

X. Na chwennych dy dy gymmydog; na chwennych wraig dy gymmydog; na'i was, na'i forwyn, na'i ych, na'i assyn, na dim a'r sydd eiddo.

Arglwydd trugarha wrthym, ac scrifenna yr holl gyfreithian hyn yn ein calonnau ni atolygwn i ti.

Qwestion.

Beth yr wyt ti yn ei ddyscu yn bennaf wrth y gorchymynion hyn?

A. Yr ydwyf yn dyscu dau beth: fy nyled tu ag at Dduw, a'm dyled tu ag at fy nghymmydog.

Q. Pa beth yw dy ddyled tu ag at Dduw.

A. Fy nyled tu ag at Dduw yw, Credu ynddo, ei ofni, a'i garu, a'm holl galon, a'm holl enaid, ac a'm holl

holl nerth, Ei addoli ef, diolch iddo, rhoddi fy holl ymddiried ynddo, galw arno, Anrhydeddu ei sanctaidd Enw ef a'i air, a'i wasanaethu yn gywir holl ddyddiau fy mywyd.

Q. Pa beth yw dy ddyled tu ag at dy gymmydog?

A. Fy nyled tu ag at fy nghymmydog yw, ei garu fel fi fy hun, a gwneuthur i bob dyn megys y chwennychwn iddo wneuthur i minneu. Caru o honof, anrhydeddu, a chymmorth fy nhad a'm mam. Anrhydeddu, ac ufyddhau i'r Brenhin a'i swyddogion. Ymddarostwng i'm holl lywiadwyr, dyscawdwyr, Bugeiliaid ysprydol, ac athrawon. Ymddwyn o honof yn ostyngedic, gan berchi pawb o'm gwell. Na wnelwyf niwed i neb ar air na gweithred. Bod yn gywir ac yn union ymmhob peth a wnelwyf. Na bo na chas na di-

gasedd

gaſedd yn fyngbalon i neb. Cadw o honof fy nwylaw rhac chwilenna a lledratta, a chadw fy nhafod rhac dywedyd celwydd, cabl-eiriau, na drwg abſen. Cadw fy nghorph mewn cymhedroldeb, ſobrwydd, a diweirdeb. Na chybyddwyf, ac na ddeiſyfwyf dda na golud neb arall. Eithr dyſcu, a llafurio yn gywir, i geiſſo ynnill fy mywyd, a gwneuthur a ddylwyf, ymmha ryw fuchedd bynnac y rhyngo bodd i Dduw fy ngalw.

my good child, know this,

Q. Fy anwyl blentyn, gwybydd hon ymma, nad wyt ti abl i wneuthur y pethau hyn o honot dy hun, nac i rodio yngorchymynion Duw nac iw waſanaethu ef, heb ei yſpyſol rad ef; yr hwn ſydd raid i ti ddyſcu yn waſtad ymorallw am dano trwy ddyfal weddi. Gan hynny moes i mi glywed a fedri di ddywedyd gweddi yr Arglwydd?

A. Ein

Atteb.

EIn Tad yr hwn wyt yn y nefoedd, sancteiddier dy Enw, deued dy deyrnas. Bid dy ewyllys ar y ddaiar megys y mae yn y nefoedd. Dyro i ni heddyw ein bara beunyddiol; A maddeu i ni ein dyledion, fel y maddeuwn ni i'n dyledwyr. Ac nac arwain ni i brofedigaeth. Eithr gwaret ni rhag drwg. Canys ti biau'r deyrnas, a'r nerth, a'r gogoniant, yn oes oesoedd, Amen.

Q. Pa beth ydd wyt ti yn ei erchi ar Dduw yn y weddi hon?

A. Yr ydwyf yn erchi ar fy Arglwydd Dduw, ein Tad nefol, yr hwn yw rhoddwr pob daioni, ddanfon ei rad arnaf, ac ar yr holl bobl, fel y gallom ei anrhydeddu ef, a'i wasanaethu, ac ufyddhau iddo megis y dylem. Ac ydd wyf yn gweddio ar Dduw ddanfon i ni bob peth angenrheidiol

rheidiol, yn gystal i'n heneidiau, ac i'n cyrph; A bod yn drugarog wrthym, a maddeu i ni ein pechodau; A rhyngu bodd iddo ein cadw a'n amddeffyn ym mhob pericl ysprydol a chorphorol: A chadw o honaw nyni rhag pob pechod ac anwiredd, a rhag ein gelyn ysprydol, a rhag angeu tragywyddol. A hyn yr ydwyf yn ei obeithio y gwna efe o'i drugaredd a'i ddaioni, trwy ein Harglwydd Iesu Grist, ac am hynny ydd wyf yn dywedyd, Amen. Poet gwir.

Qwestion.

Q: Pa sawl Sacrament a ordeiniodd Christ yn ei Eglwys?

A. Dau yn unig, megys yn gyffredinol, yn angenrhaid i Iechydwriaeth, sef, Bedydd a Swpper yr Arglwydd.

Q. Pa beth yr wyt ti yn ei ddeall wrth y gair hwn Sacrament?

A. Yr wyf i yn deall, Arwydd

gweledig oddiallan o ras ysprydol oddifewn a roddir i ni, yr hwn a ordeiniodd Christ ei hun, megys modd i ni i dderbyn y gras hwnnw trwyddo, ac i fod yn wystl i'n siccrhau ni o'r gras hwnnw.

A. Pa sawl rhan y sydd mewn Sacrament?

Q. Dwy, yr arwydd gweledig oddiallan, a'r gras ysprydol oddifewn.

Q. Pa beth yw'r Arwydd gweledig oddiallan, yn y Bedydd.

A. Dwfr: yn yr hwn y trochir y neb a fedyddir, neu yr hwn a daenellir arno, Yn enw yr Tâd, a'r Mâb, a'r Yspryd glân.

Q. Pa beth yw'r gras ysprydol oddifewn?

A. Marwolaeth i bechod, a genedigaeth newydd i gyfiawnder. Canys, gan ein bod ni wrth naturiaeth wedi ein geni mewn pechod, ac yn blant digofaint, drwy Fedydd

y

y gwneir ni yn blant gras.

Q. Pa beth a ddisgwilir gan y rhai a fedyddier?

A. Edifeirwch, drwy 'r hon y maent yn ymwrthod a phechod: A chyda hynny ffydd drwy 'r hon y maent yn ddiysgog yn credu addewidion Duw, y rhai a wneir iddynt yn y Sacrament hwnnw.

Q. Pa ham wrth hynny y bedyddir plant bychain, pryd na's gallant o herwydd eu hieuengtid gyflawni y pethau hyn?

A. Ie, y maent hwy yn eu cyflawni hwy drwy eu meichiau, y rhai sy yn addaw, ac yn addunedu pob un o'r ddau yn eu henwau hwynt: y rhai, pan ddelont i oedran, y maent hwy eu hunain yn rhwym i'w cyflawni.

Q. Pa ham yr ordeiniwyd Sacrament Swpper yr Arglwydd?

A. Er mwyn tragwyddol gofam aberth dioddefaint Christ, a'r lles-

had

had yr ydym ni yn ei dderbyn oddiwrtho.

Q. Pa beth yw y rhan oddiallan neu 'r Arwydd, yn Swpper yr Arglwydd?

A. Bara a gwin, y rhai a orchymmynnodd yr Arglwydd eu dderbyn

Q. Pa beth yw y rhan oddifewn, neu 'r peth a arwyddoceir [wrth yr arwyddion hynny?]

A. Corph a gwaed Chriſt, y rhai y mae 'r ffyddloniaid yn wir ac yn oddiau yn eu cymmeryd ac yn eu derbyn, yn Swpper yr Arglwydd.

Q. Pa leſhad yr ydym ni yn ei gael wrth gymmeryd y Sacrament hwn?

A. Cael cryfhau a diddanu ein heneidiau drwy Griſt, megys y mae ein cyrph [yn cael] drwy 'r bara a'r gwin.

Q. Pa beth ſy raid i'r rhai a ddel i Swpper yr Arglwydd ei wneuthur?

A. Eu holi eu hunain, a ydynt hwy yn wir edifeiriol am eu pechodau a aeth heibio, ac yn sicer amcanu dilyn buchedd newydd: a oes ganthynt ffydd fywiol yn nhrugaredd Duw drwy Grist, gyda diolchus gof am ei angeu ef, ac a ydynt hwy mewn cariad perffaith a phob dyn.

Diwedd y Catechiſm.

---

## Gweddiau cyn bwyd, a diolch wedi bwyd.

### Cyn bwyd.

GOlygon pob peth sydd yn edrych i fynu, ac yn ymddiried ynot ti, O Arglwydd: tydi sydd yn rhoddi iddynt eu bwyd yn ei bryd: ydwyt yn egoryd dy law, ac yn llenwi pob peth byw a'th rad ac a'th fendith: O Arglwydd, bendithia ni, a'th holl ddoniau yr ydym ni yn eu derbyn gan dy ddirfawr haeli-

oni di, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, Amen.

Diolch wedi bwyd.

BRenhin y gogoniant tragywyddol a'n gwnel ni yn gyfrannogion o'i wledd nefol; trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen.

Duw a gatwo ei eglwys, a'r Brenhin, a'r Frenhines, a'r Tywysog, ac a roddo i ni heddwch a gwirionedd ynghrist ein Harglwydd. Amen.

Cyn bwyd.

PA un bynnag a wneloch ai bwytta ai yfed, medd S. Paul, neu beth bynnag arall a wneloch, gwnewch bob peth er mawl a gogoniant i Dduw. Amen.

Ar ôl bwyd.

I Arglwydd y gogoniant a'r gallu, yr hwn a'n creoddni, ac a'n gwaredodd ni, ac a'n porthodd ni ar hyn o amser, y byddo 'r moliant a'r diolch yr awrhon ac yn dragywydd. Amen.

## Cyn bwyd.

YR Iesu Grist, yr hwn ar ei Swpper diweddaf a'i rhoddes ei hun i ni, ac a addawodd ei gorph i'w groes-hoelio drosom, a'i waed i'w dywallt tros ein pechodau, a'n bendithio ni a'n bwyd. Amen.

## Gwedi bwyd.

GOgoniant, ac anrhydedd, a moliant, a fo yn anrheg i ti O Arglwydd Dduw, am ein porthi ni o ddechreuad ein hoes hyd yr awrhon, fel yr wyt yn rhoi lluniaeth i bob peth byw: llanw ein meddyliau ni a llawenydd a hyfrydwch, fel y bo i ni bob amser gael a fo rhaid i ni wrtho, a bod yn llawn ac yn gyfoethog o weithredoedd da, trwy Iesu Grist ein Harglwydd, Amen.

## Gweddi i'w dywedyd wrth godi yr boreu.

O Arglwydd Dduw ein Tad nefol, yr ydym yn rhoi i ti ostyngedig ddiolch, am fod yn wiw gennyt o'th dadol ddaioni, ein amddiffyn ni yr nos hon rhag pob drwg: ac yr ydym o ddifrif ein calonnau yn attolwg i ti ein cadw ni yr dydd hwn hefyd, rhag cael drwg na'i wneuthur; a rhoi i ni ras i rodio yngoleuni dy fendigedig air di, yn y cyfryw fodd ac y gallom ddwyn ffrwyth o heno i ogoniant dy fendigedig enw di, a lles i'n cymydogion, trwy Iesu Grist ein Harglwydd. Amen

## Gweddi i'w dywedyd wrth fyned i gysgu.

YR ydym ni yn mawr ddiolch i ti, O nefol Dad, trwy dy anwyl fab Iesu Grist, am i ti o'th

fawr drugaredd ein cadw ni yr
dydd hwn, Teilynga hefyd ein ca-
dw ni yr nos hon, a'n hamddiffyn
ni rhag ein holl elynion ysprydol a
chorphorol: Caniadha fod i'n
cyrph gael cysgu ac esmwythdra, ac
i'n meddyliau ni fod yn wiliadwr-
us ynot ti a'th sanctaidd air: a phan
ymddangoso tirion oleuni yr dydd,
fod i ni mewn iechyd enaid a
chorph, godi i fynu yn llawen, a
bod yn ddiolchgar i ti, a rhodio yn
ddyfal yn ein galwedigaeth, er go-
goniant i'th enw di, a lles i'n cym-
mydogion, trwy Iesu Grist ein
Harglwydd. Amen.

## Gweddi.

DUw a gatwo'r Deyrnas, a'r
Brenhin, a'i gynhoriaid, a'r
holl fonedd a'r cyffredin: Duw a
gynnorthwyo yr eglwyswyr a'i
Yspryd glan i osod allan ei wiri-
onedd ef: Duw a amddiffynno

ewyll-

ewyllyswyr da ei Efengyl, ac a'n gwnel ni yn ffyddlon ac yn dueddol tu ac atti: Duw a newidio galonnau ein gelynion ni: Duw o'i alluog nerth a ddistrywyo Anghrist a'i holl deyrnas; Duw a ddanfono llwyddiant a rhwydd-deb i'r Efengyl tros yr holl fyd, fel y bo bawb o honom ni fyw yn dduwiol ac yn union yn ein galwedigaeth, trwy Jesu Grist ein Harglwydd. Amen.

TERFYN.

